Presented to
The Church Historian Office
Great Salt Lake City, U.S.
by the Author;
Dan Jones.

Udgorn Seion Office
Swansea, Wales,
Janr 7 1856.

# UDGORN SEION,

NEU

# SEREN Y SAINT;

YN CYNNWYS

EGWYDDORION "GORUCHWYLIAETH CYFLAWNDER YR AMSEROEDD,"

MEWN

TRAETHODAU, LLYTHYRON, HANESION, PRYDYDDIAETH, &c.

"A mi a osodais wylwyr arnoch chwi, gan ddywedyd, Gwrandewch ar sain yr udgorn."—JER. VI, 17.

"Holl drigolion y byd, a phreswylwyr y ddaear, gwelwch pan gyfodo efe faner ar y mynyddoedd, a chlywch pan udgano ag udgorn."—ESA. XVIII, 3.

CYFROL VIII.

---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN D. JONES.
1855.

Tra y gwelir ymbleidiau, cenfigenau, a gau-grefyddau wedi gwau sachlen ddu dew i amdoi wynebpryd awyrgylch gwlad anghrist â chaddug, drwy yr hon ni thewyna belydr o oleuni "Haul cyfiawnder" yn uniongyrchol, arweinia *Seren y Saint* bererinion blant y nef o gam i gam drwy ddyrys anialwch y byd i'w nhoddfa glud i blith "sêr y boreu" yn Seion.

Tra y mawrygwn ein braint fwy-fwy, o gyfrol bwy gilydd o gael cyd-filwrio a'n cyd-filwyr, crefwn eu cymhorth i udganu yn groewach a phereiddiach ar *ddechreu* ein cyfrol ddyfodol, ar nad pwy udganwr a'i diwedda.

"Adref, adref, blant yr Arglwydd,
Galwad sydd i dd'od yn ebrwydd,"

fydd blaenaf, uchaf, ac olaf lais eich Hudgorn, nad pwy a fo, nes adref y delo y gwanaf o blant Seion. Sain cywir, sŵn clir, a grymusder y gwir i dreiddio i galonau ein darllenwyr rhodded Nêr i bwy bynag a chwytho drwy Udgorn Seion yw, ac a fydd taeraf ac olaf weddi, eich—

GOLYGYDD.

# AI DWYFOL OEDD CENADWRI JOSEPH SMITH?



Mae yr holl gyhoeddi, y darlithio, a'r rhybuddio i ochelyd rhagom, yr holl gam-gyhuddo, yr erlid, a'r diystyru sydd arnom, ynghyd â sêl ac ymroad diflino y Saint i argyhoeddi y byd, o erwiredd eu tystiolaeth, ac ymchwiliad treiddgar a diwyd y rhai gonest o galon o blith pob gradd a sefyllfa iddi, oll yn gynnifer o ffeithiau prawfiadol o ddyddordeb ein testun, ac yn profi y teilynga yr *achos* o'r holl gynnwrf a'r canlyniadau anghydmarol hyn arholiad diduedd, buan a thrwyadl. Mae ein gwlad, a'r byd, hyd y clywsant am enw y person hwn, fel wedi ymddeffroi o gysgadrwydd oesoedd,—ymfyddinant yn wirfoddol a dewr, naill a'i o'i blaid neu i'w erbyn. Ychydig ac anaml yw y rhai anmhleidiol. Ceir ei enw a'i goffadwriaeth mor hoff a pharchus gan y naill ag yw yn gâs a gwarthus gan y rhan arall o'r byd; ac y mae y cynhwrf yn cynnyddu gyda chyflymdra digyffelyb. Mae y cyffroad yn ormod eisoes i neb ymguddio o'r arholiad,—"ei fod islaw eu sylw;" canys mae y sylw mawr a wna ei wrthwynebwyr o hono yn awgrymu fod proffes Joseph Smith o'i ddwyfol ddanfoniad yn bwysig iawn; ac y teilynga ystyriaeth ac arholiad cyd-bwysig â hyny sydd resymeg orfodol ar y meddwl diragfarn, heblaw fod ei ganlynwyr, y rhai a'i hadnabyddant ef oreu, yn tystio y cynnwysa ei genadwri ef hynodion yr oesau a dirgelion Duw, a'i bod yn arogl o fywyd i fywyd neu o farwolaeth i farwolaeth i bawb a'i clywo.

Cydnabydda Beibl gredwyr yn rhwydd y dylai holl drigolion y byd wrando pan lefaro yr Arglwydd o'r nefoedd. ac fod eu cysur a'u lles, ie, eu bywydau yn ymddibynu ar gredu yn, ac ufyddhau i'w orchymyn nad pa mor groes y dichon fod i'w teimladau a'u credöau blaenorol. Dyfethwyd personau, trefydd, gwledydd, ïe, byd, oddieithr wyth enaid, un tro, o herwydd di-

ystyru cenadwri Duw am "dwyll dyn ynfyd." Ymddygiad pob un at genadwri ddwyfol yn mhob oes a sefydla ei dynghed yn dragywyddol; a phob diystyrwch ar ei was anfonedig a ystyria Duw yn ddiystyrwch arno Ef ei hun.

Nid awgrymwn fod *haeriad* dyn ei hun, yn anymddibynol ar brawfiadau, yn ddigonol brawf o'i ddwyfol ddanfoniad; eithr mae ei *broffes* o hyny yn teilyngu ymchwiliad iddi, ai gwir ynte anwir ydyw. Nid oes hanes am was i Dduw a ddaeth i'n daear heb haeru ei ddanfoniad, ac y mae yn ffaith hefyd na ddanfonodd Duw erioed was i'r byd gyda chenadwri y gallasai y byd gael eu twyllo ganddo ef na chan ei genadwri. Duw ei hun ac nid ei was sydd i brofi dwyfoldeb ei anfoniad a geirwiredd ei genadwri—ni ddywedodd Duw wrth un o'i weision erioed "Dos i'r byd a phrofa i'r bobl ddarfod i mi dy ddanfon." Naddo, meddwn, ni ddysgwyliodd i ddyn brofi dwyfoldeb—dynol yw yr oll a all dyn wneuthur ar y goreu; rhaid cael Duw i brofi dwyfoldeb, a chan mai dwyfoldeb danfoniad Joseph Smith yw ein cwestiwn, os nad oes prawfiadau o hyny i'w cael gan Dduw, gwrthoder ei haeriad am ryfyg, ac yntau am dwyllwr; eithr, os dichon Joseph Smith roddi cyfarwyddiau pa fodd y gall y darllenydd gael gan Dduw brofi dwyfoldeb ei genadwri ef tu hwnt i bob dadl, bydd Duw ac *nid dyn* wedi profi drwy hyny mai Efe a ddanfonodd Joseph Smith; ac ni fyddai holl haeriadau, chwedlau, a chywreinrwydd holl ddynion y byd i gyd yn ddigonol i wrthbrofi ffaith ddwyfol brofedig. A gynnygia rhywun o'r doethion, y Parchedigion a broffesant fod o ddwyfol ddanfoniad, neu flaenor plaid drwy ein gwlad na'r byd gyfarwyddo ei ufyddion fel yr addawa Joseph Smith, pa fodd i gael sicrwydd gan Dduw o'i ddwyfol ddanfoniad? Os na wnant, rhaid cyfaddef fod Mr. J. Smith yn fwy *annhebyg* i dwyllwr nag yw pawb na wnant hyny.

Gwahaniaetha cenadwri ddwyfol, o enau gwas ysbrydoledig, mor fawr oddiwrth genadwri ddynol, fel mai hawdd yw i garwr y gwirionedd, a geisio, ei ganfod;—treiddia idd ei feddwl megys cleddyf dau-finiog, dad-wreiddia o'r galon gau draddodiadau, a thrywana wythienau heiarnaidd hen gredoau a chyfeiliornadau a gyssegrwyd drwy henafiaeth, ac a wnaed yn barchus a phoblogaidd gan ddoethineb ddynol. Ysgara, gyda manylrwydd perffaith, rhwng gwirionedd a chyfeiliornad—rhwng dysgeid-

iaeth Crist ag athrawiaethau dynion; dadgwmchwela gyda rhwyddineb bob rhesymeg a ddwg doethineb ddynol i'w herbyn. Diflana yr holl opiniynau, credoau, a'r cyfundraethau a ffurfiwyd gan ddoethineb ddynol yn eu hathrofäau a'u colegau o'i blaen, megys y diflana gwlith y boreu o flaen pelydrau yr haul—suddant oll i ebergofiant mewn gwrthgyferbyniad i genadwri uniongyrchol o'r nef, yr hon a adlewyrcha oleuni i'r meddwl gonest megys tanbeidrwydd haul canol dydd, ac a ddywed yn nghlystiau ei hymchwiliwr, "Dyma'r ffordd, rhodia ynddi." Tra mai ofwsn ar y goreu yw cynnysgaeth dynol athrawiaethau, "*Sicrwydd* mawr yn yr Ysbryd Glân," a gwybodaeth o'i dwyfoldeb yw ei phrif nodwedd hi, o'r hwn ni adawa ei hufyddion yn amddifad; y mae hi mor wahanol i genadwri ddynol, fel na chyssyllta, ni chymmysga, ac ni fyn unrhyw gyfeillach â neb o honynt erioed; llefara, "*Fel hyn medd yr* ARGLWYDD," gyda dwyfol awdurdod; a hèna ufydd-dod gan bob gradd a phob cenedl. A ufyddhao iddi hyd y diwedd a fydd cadwedig; a'i gwrthodo a gondemnir, nad faint ei gyfiawnder a'i ddaioni blaenorol—ni chaniateir *un eithriad*. Y cyfryw oedd pob dwyfol genadwri a ddaeth i'n byd, ac nid Duw anghyfnewidiol a ddenfyn yn groes i hyn oll; os nad cyffelyb yw cenadwri Joseph Smith na chreder mai dwyfol ydyw.

I fyned yn mlaen i'r arholiad,—y cwestiwn mawr ei bwys yw, ai o'r nef ynte o ba le y mae cenadwri Joseph Smith? Os Duw a'i danfonodd goreu po cyntaf i bawb ddeall hyny. Os nadê, nid yw yr eglwys a sefydlodd yn eglwys i Dduw, eithr mae yr ugeiniau o filoedd a fedyddiwyd iddi yn aros yn eu pechodau—eu haeriadau yn rhyfygus—eu tystiolaethau yn gau, a hwythau o bawb y truenusaf.

Er fod cydymffurfiad trwyadl â'r *cynllun* yn anhebgorol i gyfundrefn ddwyfol, etto nid yw yr efelychiad perffeithiaf a manylaf o'r *ffurf*, os yn amddifad o'r *gallu* a'r *awdurdod* yn brawf digonol fod ei sefydlwr o ddwyfol ddanfoniad. Os na ddwg Mr. Smith well prawfiadau o'i *broffes* nâ'r *ffurf*, na choelier ei fod ef yn was i Dduw mwy nag yw sefydlwyr y sectau na feddant braidd gymmal, asgwrn, na migwrn o Gorff Crist eithr o'r ddau ymocheler rhagddo, o herwydd fod ei ffurf yn fwy peryglus i hudo, o gymmaint ag yw yn debycach i'r gyfundrefn wreiddiol. Ni phroffesa eglwysi ereill eu bod yn meddu

apostolion, prophwydi, efengylwyr, a gweision ysbrydoledig Duw; yr hyn sydd brawf mor eglur a chadarn ag yw eglurdeb a chadernid geirwiredd y Testament Newydd, na ddichon eu bod hwy yn eglwysi i Dduw. Eithr proffesa y Saint eu bod yn mwynhau yr holl swyddau a'r doniau anhebgorol er bod yn eglwys i Grist, a phroffesant eu bod yn meddu yr awdurdod anhebgorol i iawn weinyddu yn holl ordinhadau, swyddau, a gweinidogaethau yr eglwys wreiddiol, yr hyn a brawf eu tebygolrwydd i'r cynllun, hyd ag y mae y mwynhâd o'r un athrawiaethau, ordinhadau, swyddau, &c., yn brawfiadol o hyny. Yn yr holl bethau hyn, ynte, dysgodd Mr. Smith yr un pethau, ac efelychodd weision Duw yn y cyn oesoedd; ac hyd yma ni ellir cael tystiolaeth o'r Testament Newydd yn erbyn dim o'i genadwri; hyd yma saif neu cwymp ei ddwyfol ddanfoniad ef ar yr un sail ag y saif awdurdod awduron hwnw; ac un-peth yw gwrthod eglwysi y naill a gwrthod eglwysi y llall o ran eu ffurf a'u proffes.

Un peth sydd sicr a hunan-eglur, sef, pe na buasai prawfiadau ychwanegol o ddwyfol ddanfoniad Mr. Smith, na'i efelychiad perffaith o'r eglwys a addefir yn ddwyfol gynt, ni ddichon neb wrthbrofi ei genadwri drwy ysgrythyr; eithr y mae ei genadwri yn anffaeledig nad faint oedd brychau *tybiedig* ei gymmeriad ef. A ellir dweyd hyn mor briodol am ryw genadydd arall a draethodd ei genadwri neu a sefydlodd gyfundrefn yn ein gwlad, neu yn unrhyw wlad arall, er's dau cant ar bymtheg o flynyddau? Na ellir yn ddiau, onite dangoser y prawf fel y gwneir yma. Er fod dynion daionus, o awydd i wasanaethu Duw ac i lesoli eu cyd-ddynion, lawer o honynt, wedi sefydlu cyfundraethau a chymdeithasau drwy ddoethineb ddynol, mae eu hathrawiaethau cymmysgedig o wir a gau, a'u croes-farnau am ordinhadau a phwysicaf bethau eglwys Dduw, yn gyfryw na oddefant brawf dwyfol ysbrydoliaeth am eiliad; ymddangosai cyfeiliornadau yn rhy eglur i'w cuddio—rhyw beth yn ormod neu rhy brin—anghydffurfiad â'r cynllun,—cam-weinyddiad neu esgeulusdod hollol o ryw ordinhad, neu ryw ŵyrgamrwydd arall a arddangosai mai *dyn*, nad Duw a'i gwnaeth. Ac yn awr, wedi fod holl ddoethineb ddynol goreuon byd yn dyfeisio, yn myfyrio, ac yn ymdrechu eu goreu hyd oesau lawer i osod sylfaen eglwys i Dduw, ar yr hon y gellid adeiladu

yn effeithiol, ym Ideffrown yn nghanol aflyneiddiwch i glywed hanes claddedigaeth eu sefydlwyr o dan garneddau eu hadeiladau. a'u holynwyr naill a'i yn ceisio ail-sefydlu cof-adeiladau o'r gwreiddiol, neu bob un drosto ei hun yn defnyddio a fyno o'r hen feini a chymmrwd i adeiladu yn ol ei ddyfais ei hun, y rhai yn feunyddiol a faluriant—a holltant yn gyrbibion, ac a brofant na ddeil yr hen ddefnyddiau dynol danbeidrwydd dwyfol wres, na daeargrynfäau moesol y dyddiau diweddaf—cysgodau y gwill ydynt, a drychiolaethau heb nemawr debygolrwydd i'r hen *ffurf*, heb sôn am eu hamddifadrwydd o'i *gallu* hi. Pa fodd y dygwyddodd hyn oll? Os twyllwr oedd Mr. J. Smith, o ba le y cafodd gymmaint mwy o ddoethineb nâ'r oll o'i gyn a'i gyd-oeswyr? Pwy a'i cymmysgaethodd â doethineb ac â gallu anhebgorol er sefydlu eglwys yn hollol gydweddol â'r hen bortread dwyfol? Pa fodd y gallasai twyllwr ragori mor fawr ar holl ddoethineb grynoedig dwy ganrif ar bymtheg fel ag i greu cyfundrefn wahanol i bob un arall dan y nefoedd, ac etto yn hollol gydweddol â'r gyfundrefn a sefydlodd Iesu a'i ddysgyblion i bob manylrwydd, yn mhob rhan o honi? Beth! twyllwr yn canfod drwy dywyllwch dudew yr oesoedd, ac yn cyhoeddi athrawiaeth berffaith yn mhob ystyr, yn erbyn yr hon ni ellir dwyn un prawf ysgrythyrol! Byddai hyny yn wyrth na chlywsom am ei chyffelyb yn hanesyddiaeth ein byd!

Mae *purdeb* ac *anffaeledigrwydd* athrawiaeth y Prophwyd newydd hwn yn dystiolaeth gymhariaethol, o gryn deilyngdod, i brofi ei ddwyfol ddanfoniad.

Etto ni chaniatawn fod hyd y nod *athrawiaeth berffaith* yn brawf digonol o ddwyfoldeb danfoniad ei sefydlwr hi. Gallwn amgyffred y posiblrwydd, er nad yw yn debygol, i ddyn ddysgu athrawiaeth ddigymmysg a chyfeiliornadau, a bod yn amddifad, er hyny, o'r *awdurdod* anhebgorol er iawn weinyddu ei hordinhadau. Dysgodd Swedenborg, Irvin, Luther, Calfin, Knox, Wesley, Campbell, a llu o ddiwygwyr enwog ereill egwyddorion a gynnwysent gyfartalwch o wirionedd, etto yn gymmysgedig a chyfeiliornadau, yr hyn a wrthbrofa eu dwyfol ddanfoniad, hyd y nod pe cyflawnasent wyrthiau. Nid oes genym enghraifft mewn hanesyddiaeth o athrawiaeth berffaith yn mhob ystyr wedi cael ei dysgu gan neb, oddieithr ei fod o ddwyfol ddanfoniad; ac un-peth yw dweyd fod Mr. Smith yn

dwyllwr ar ol iddo wnethur hyn oll a dweyd ei fod wedi cyflawni gwyrth drwy hyny. Pe dysgasai Mr. Smith athrawiaeth gyfeiliornus mewn unrhyw ystyriaeth, gortodasid ni i'w wrthod am dwyllwr. hyd y nod pe, fel swynwyr yr Aifft, y troiasai afonydd yn waed. pe y creuasai lyffaint dirif. neu pe, fel Dewines Endor, y cyfodasai y marw o'i fedd. O'r ochr arall. os dysgodd efe athrawiaeth bur a pherffaith, mae yn bosibl ei fod wedi cael ei ddanfon gan Dduw. pe na wnaethai yr un wyrth mwy nag y gwnaeth Ioan Fedyddiwr, y Prophwyd Noë, a llawer ereill ag y dywed yr Hen a'r Newydd Destamentau eu bod yn weision i Dduw.

Dysga yr ysgrythyrau ni fod Duw wedi danfon amryw brophwydi enwog yn y cyn oesoedd gyda chenadwriaethau a gynnwysent dynghed breninoedd, teyrnasoedd, a chenedlaethau; anufydd-dod i ba rai a ddygai ddamnedigaeth : ac etto. nid oes hanes fod y rhai hyny wedi cyflawni unrhyw wyrth. Pa ddyn a geir ddigon doeth a galluog i *brofi athrawiaeth* Mr. Smith yn gyfeiliornus? Gwir fod lluoedd wedi profi eu hunain ddigon ffol i *haeru* hyny, ac wedi gwneyd yr oll a allent i'w phrofi yn gyfeiliornus ; eithr pa le y mae heddyw y concwerwr a ennillodd y fuddugoliaeth? Gwir ddarfod i lawer coegddyn hunanol ddyfod i'r maes yn ei herbyn ag ystoriau anwireddus a chwedlau disail am ei gymmeriad ef, a chyhoeddi ei thranc, ei chladdedigaeth, a chanu ei mharwnad ; eithr erbyn y lladdai efe ei hun, wele arall yn y maes yn ymorchestu mai efe a roddai y clwyf marwol iddi, ac mai celwydd a haerasai ei ragflaenydd. Ac oni chedwir ein gwlad mewn dwndwr a berw rhyfel yn erbyn "Mormoniaeth" o hyd,—pawb yn ei gwrthbrofi ; pob cawr yn ei lladd hi yn ei dro; ac er pob peth.—ei bod hi yn ddigon byw o hyd i arswydo coel-grefyddwyr, sydd ffaith a brofant eu hunain drwy eu gwrthryfel. Eithr, meddwn etto. pwy fawr ddyn a'i *profodd* yn gyfeiliornus? Addawsia y cerrig mewn atebiad —pwy!

Pwy a ddichon ddangos gwahaniaeth rhwng dysgeidiaeth Mr. Smith a dysgeidiaeth Crist a'i apostolion? A ddysgasant hwy fedydd edifeirwch er maddeuant pechodau? Felly y dysgodd Mr. Smith, A arddodent hwy ddwylaw er cyflwyno dawn yr Ysbryd Glân? Felly y dysgodd Mr. Smith. A ddywedasant hwy fod apostolion, prophwydi, efengylwyr, bugeil-

iaid, athrawon, esgobion, henuriaid, &c. ysbrydoledig yn anhebgorol yn eglwys Crist? Felly yn gywir y dywedodd Mr. Smith. A ddysgodd y Saint cyntefig yr anghenrheidrwydd o fwynhau dadguddiadau newyddion, gweledigaethau, gweinidogaethau angylaidd, dawn iachâu, llefaru â thafodau newyddion, cyfieithu drwy yr Ysbryd, prophwydo, a'r holl ddoniau ysbrydol ereill yn yr eglwys? Felly yn gywir y dysgodd y Prophwyd mawr olaf hwn. Pa le ynte mae anghydffurfiad ei ddysgeidiaeth ef â'r eiddynt hwythau? Nid ellir ei gael. Mae *dysgeidiaeth* y naill mor berffaith ag yw dysgeidiaeth y lleill; ac meddwn etto, mae y cydgordiad perffaith hwn mewn dysgeidiaeth yn dystiolaeth gref fod Mr. Smith wedi cael ei ddanfon gan Dduw.

*Yn ail.—Pa fodd* y tystiolaetha Mr. Smith ddarfod iddo gael goruchwyliaeth o'r efengyl? Tystia fod un o angylion Duw, enw yr hwn yw Moroni, wedi ymddangos iddo; fod yr angel hwn yn un o'r hen brophwydi a fu yn mhlith gweddillion Joseph ar gyfandir yr Americ. Tystiodd fod Moroni wedi amlygu iddo pa le y cuddiasai efe oraclau cyssegredig ei genedl, er ys tua phedwar cant ar ddeg o flynyddau yn ol; fod yr oraclau hyn yn cynnwys "cyflawnder yr efengyl," megys ei dysgwyd gynt gan y gangen hon o dŷ Israel. Rhoddodd allu i Mr. Smith i amlygu cynnwysiad y croniclau hyn i genedloedd y ddaear. Yn awr, pa fodd y cyduna tystiolaeth Mr. Smith am y peth hyn â dadguddiad Ioan ar Ynys Patmos? Ioan a brophwyda (Dad. xiv, 6) mai drwy weinidogaeth *angel* o'r nef yr adferid yr efengyl dragywyddol i'r ddaear. Tystia Mr. Smith ei fod ef wedi derbyn goruchwyliaeth yr efengyl gan *angel.* Traddodai y naill brophwydoliaeth, tystiai y llall y cyflawniad o honi. Er i Mr. Smith ddwyn athrawiaeth bur, pe dywedasai nad gan angel y derbyniodd efe hi, gallasai pawb ddeall wrth hyny mai twyllwr a fuasai. Os twyllwr oedd Mr. Smith, pa fodd y galluogwyd ef, nid yn unig i ddysgu athrawiaeth berffaith, eithr i ddeall hefyd drwy ba gyfrwng yr adferid yr athrawiaeth hono i'r ddaear? Os twyllwr oedd, paham y dewisodd dystio mai angel a'i cyflwynodd, tra y gwyddai fod dyfodiad angel yn beth mor anhygoel ac annhoblogaidd yn ngolwg ei gyd-ddynion? Pe twyllwr ddigon doeth i ddysgu athrawiaeth berffaith, pa fodd nad oedd ddigon doeth i ddweyd

ei fod wedi ei chael hi drwy ryw ddull mwy credadwy yn ngolwg y byd? A fu Mrd. Irving, Wesley, y Pab, Mahomet, neu ryw dwyllwr mewn oes neu wlad yn ddigon doeth, nid i ddysgu athrawiaeth berffaith, ond hefyd i dystiolaethu ddarfod iddynt ei chael hi drwy *gyfrwng angel* o'r nefoedd? Os na wnaethant felly, pe dysgasent athrawiaeth bur a santaidd, etto ni chaniataem eu bod wedi derbyn awdurdod i weinyddu ei hordinhadau. Pe dywedasai Mr. Smith iddo ddyfod o hyd i'r oraclau hyn yn ddamweiniol, a'i fod wedi cael ei ysbrydoli i'w cyfieithu drwy yr Urim a Thummim; neu pe proffesasai fod wedi derbyn ei genadwri drwy yr Ysbryd Glân, neu drwy ryw angel *arall* heblaw Moroni; neu drwy unrhyw gyfrwng neu fodd amgen nag y dywedodd, gallasid gwybod yn y fan, heb ymholiad pellach i'r peth, mai twyllwr a fuasai. Pa fodd y meddyliodd Mr. Smith am yr holl fanylrwydd dirgel hyn os twyllwr oedd? A ganfyddodd rhywun o blith holl ddoeth ddiwygwyr a duwinyddion yr oesau yr anghenrheidrwydd o'r holl gyd-ymffurfiad manwl hyn? O ba le mae ei ddoethineb mwy ef—ei ddealltwriaeth ddigyffelyb—a'i ragwelediad treiddgar—fel y rhagorai gymmaint ar yr holl dwyllwyr a fuont yn ystod y 1700 o flynyddau mynedol? Pwy na chyfaddefa hyn oll yn dystiolaethau cryfion o'i ddanfoniad uwch-ddynol?

*Yn drydydd.*—Ni buasai adferiad yr "efengyl dragywyddol" i'r ddaear drwy yr angel Moroni o unrhyw fudd i ddynion, oddieithr fod rhyw un wedi cael ei gynnysgaethu ag awdurdod i'w phregethu ac i weinyddu ei hordinhadau. Gallasai Moroni ddadguddio llyfr a gynnwysai drefn brydferth a gogoneddus yr iachawdwriaeth, eithr ni allasai neb ufuddhau, hyd y nod i'w hegwyddorion cyntaf, heb *weinyddwr o ddwyfol awdurdodiad* ac *ordeiniad* i'w phregethu, i fedyddio, arddodi dwylaw er cyflwyno dawn yr Ysbryd Glân, &c. Eithr a ordeiniodd Moroni Mr. Smith i'r apostoliaeth, gan orchymyn iddo weinyddu ordinhadau? Naddo. Eithr paham na chyflwynodd *awdurdod* drwy *ordeiniad*, yn ogystal â dadguddio yr efengyl dragwyddol iddo? O herwydd nad ymddengys fod ganddo hawl i wneuthur hyny.

Nid yw pob angylion yn gydradd mewn awdurdod—nid y'nt oll yn dal yr un allweddau. Yr oedd Moroni yn brophwyd, eithr nid oes genym hanes ei fod yn dal swydd apostol; ac, os nad oedd, nid oedd ganddo hawl i ordeinio Mr. Smith i swydd

na feddiannodd ei hunan. Diddadl iddo wneuthur yr oll a orchymynwyd iddo wneuthur, yr hyn oedd dadguddio "pren Ephraim,"—cronicl ei dadau, yn cynnwys yr efengyl dragywyddol. Pa fodd, ynte, y cafodd Mr. Smith swydd apostol, gan na feddai Moroni hawl i'w ordeinio i'r swydd hono? Tystia Mr. Smith fod Pedr, Iago, ac Ioan wedi dyfod ato yn angylion gwasanaethgar, a thrwy arddodiad dwylaw iddynt ei ordeinio yn apostol, gan orchymyn iddo bregethu, bedyddio, arddodi dwylaw er cyflwyno dawn yr Ysbryd Glân, a gweinyddu holl ordinhadau yr efengyl, megys y gwnaethent hwy eu hunain pan ar y ddaear. A broffesodd Swedenborg, apostolion Irving, neu unrhyw dwyllwyr ereill yn yr oesau tywyll hyn fod yr apostoliaeth wedi ei chyflwyno iddynt gan y rhai olaf a'i mheddai—gan angel a feddai y swydd hono ei hunan? Naddo: o ganlyniad, nid ydynt apostolion, eithr twyllwyr. Pe proffesasai Mr. Smith fod wedi derbyn yr apostoliaeth drwy ddadguddiad yr Ysbryd Glân, heb ordeiniad o dan ddwylaw apostol, deallasem yn eglur mai gau a fuasai ei broffes, ac mai twyllwr a fuasai yntau. Os yn dwyllwr, pa fodd y darganfyddodd Mr. Smith hyn? Paham na ffugiasai yr apostoliaeth heb ordeiniad gan apostol, fel y gwnaeth yr Irvingiaid? Pa fodd y cafodd efe gymmaint mwy o ddoethineb nag oedd gan Mr. Irving, fel ag i ddeall na allasai efe fod yn apostol oddieithr iddo gael ei ordeinio gan apostol? Rhaid i'r sawl a grêd mai gau apostol oedd Mr. Smith, gyfaddef ei fod wedi dangos llawer mwy o ddoethineb nag a wnaeth yr holl gau apostolion a fuont o'i flaen ef, er eu holl ddysgeidiaeth a'u talentau mawrion. Onid yw hyn yn ffurfio rhesymeg gyffelybiaethol arall bur gref i brofi *dwyfoldeb danfoniad Mr. Smith.*

Mae'r fath fanylrwydd â hyn mewn cyflawniad o bethau o'r fath ddirfawr bwysigrwydd mewn gwrthgyferbyniad i'r ffaith fod miliynau wedi cyfeiliorni ynddynt o'r blaen, yn arddangos rhywbeth yn uwch-*ddynol,*—arddengys *ysbrydoliaeth* yr Hollalluog. Mae purdeb athrawiaeth Mr. Smith—cydgordiad perffaith ei dystiolaeth â'r eiddo Ioan o barthed i'r *modd* yr adferid yr efengyl dragywyddol i'r ddaear, a chyssondeb ei dystiolaeth am y *modd* yr adferwyd yr apostoliaeth yn dystiolaethau cedyrn, yn gydgordiol ardderchog â, ac yn cadarnhau eu gilydd; mae ein tystiolaethau yn amlhau, ac yn cryfhau yn gyfartal i yr ym-

elwiliad i bob sefyllfa ac amgylchiad cyssylltiedig; ac yn gorfodi argyhoeddiad braidd yn anwrthwynebol ar y meddwl fod Mr. Smith o *ddwyfol* ddanfoniad.

*Yn bedwerydd.*—Tystia Mr. Smith ei fod wedi derbyn trwy weinidogaeth angylion, nid yn unig goruchwyliaeth o'r efengyl a gallu ac awdurdod yr apostoliaeth, eithr proffesa hefyd fod wedi derbyn, drwy ddadguddiad a gorchymyn oddiwrth Dduw oruchwyliaeth i gasglu yr holl Saint ynghyd o blith yr holl genedloedd. Yn awr, mae yr athrawiaeth o gasglu y Saint yn nghyd yn y dyddiau diweddaf yn *wirioneddol* neu *gyfeiliornus*; os cyfeiliornad yw, twyllwr yw Mr. Smith o angenrhaid. Ni ddichon fod ei gywirdeb digyffelyb ar bob pwnc arall o'i gyfundrefu yn ddigonol i'w gyfiawnhau; os yw yr un pwnc hwn, sef athrawiaeth yr ymgasgliad, yn gau, mae hyny ei hunan yn ddigonol yn ein golwg ni i'w brofi yn dwyllwr tu hwnt i ddadl. Paham hyny? O herwydd y proffesa fod wedi derbyn yr un hon fel pob athrawiaeth arall o'i eiddo, drwy *ddadguddiad* a *gorchymyn* uniongyrchol o'r nef. O'r ochr arall, os yw athrawiaeth yr ymgasgliad yn un wirioneddol ac ysgrythyrol, bydd hyny yn ffurfio tystiolaeth arall a gynnorthwya nid ychydig ar yr oll a nodwyd i brofi fod Mr. Smith o ddwyfol ddanfoniad.

Dichon i athrawiaeth fod yn wirioneddol ac etto heb fod yr ysgrythyrau yn sôn gair am dani; er enghraifft, yr oedd athrawiaeth Noë o ymgasglu i'r arch,—Lot, o ffoi o Sodom, ac athrawiaeth Crist o ffoi o Jerusalem i'r mynyddoedd am waredigaeth, oll, yn wirioneddau, dwyfol orchymynedig, er hyny, ni ellid profi na gwrthbrofi yr un o honynt drwy ysgrythyrau y prophwydi rhagflaenol i hyny. Yr un mor ddichonadwy yw athrawiaeth Mr. Smith o gasglu y Saint yn y dyddiau diweddaf fod yn wirionedd dwyfol orchymynedig, pe na fuasai un ysgrythyr yn sôn gair am y fath beth; ond ni fyddai cyhoeddiad Mr. Smith o'r athrawiaeth yn un math o brawf, o tan yr amgylchiad yna, ei fod ef o ddwyfol ddanfoniad; eithr os gellir profi fod yr athrawiaeth hon yn ysgrythyrol, hyny yw, os oes prophwydoliaethau yn yr hen ysgrythyrau yr ymgasglai y Saint mewn *oes* benodol, drwy *ffordd* benodol, a thrwy *gyfryngau* penodedig, ac os daeth Mr. Smith yn yr *oes* benodol hono, gan broffesu ei fod wedi cael cenadwri i gasglu y Saint yn y *ffordd*

benodol hono, a thrwy y *cyfryngau* a ragfynegodd yr ysgrythyrau, yna bydd cydgordiad perffaith a manwl proffes Mr. Smith o dderbyniad ei genadwri, â'r prophwydoliaethau ysgrythyrol am y fath waith neu genadwri, yn dystiolaeth gadarnhaol mai Duw a'i danfonodd ef.

Mae yr athrawiaeth o ymgasgliad pobl Dduw ac Israel yn nghyd yn y dyddiau diweddaf, yn rhy hunan-eglur drwy yr ysgrythyrau i fod anghen dyfynu llawer yma er ei phrofi. Paul a alwai yr oruchwyliaeth a gynnwysai ymgasgliad plant Duw ynghyd yn "oruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, yn yr hon y crynhoa Efe ynghyd yn Nghrist Iesu bob peth sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear ynddo Ef." Gesyd efe yr oruchwyliaeth hon yn mhlith y dyfodol i'w oes ef, a dywed mai dwyfol fyddai yr ymgasgliad, drwy mai "Efe," sef Duw a'i gwnelai. Gwelodd Ioan yn mhen tua chan mlynedd ar ol genedigaeth yr Iesu, y pethau mawrion a rhyfeddol a gymmerent le yn ystod canrifoedd dyfodol. Gwelai eglwysi Asia, y rhai oeddent y pryd hyny o dan ei arolygiaeth ef, yn myned i glaiarineb dirywiadol. Portreadwyd o flaen ei olygon gan angel, y dirywiad trwyadl oddiwrth burdeb yr efengyl ag oedd i gymmeryd lle dros wyneb yr holl ddaear, o dan deyrnasiad "Mam puteiniaid y byd"—y Babilon fawr, yr hon a wnelai yr holl genedloedd yn feddw gan win llid ei godineb hi. Efe a welodd, ar ol bod holl genedloedd y byd mewn tywyllwch dudew am oesoedd yn amddifad o eglwys, heb apostolion, heb brophwydi, heb gael gweinidogaeth angylaidd, heb fwynhau un genadwri rasol o'r nef, y cyhoeddid un genadwri o drugaredd i'r holl bobloedd—y danfonid un oruchwyliaeth o newyddion da o'r nef drwy offerynoliaeth angel, yn cynnwys adferiad yr efengyl dragywyddol, cyhoeddiad cyffredinol yr hon drwy yr holl fyd, a ddilynid gan lef yn cyhoeddi, "Daeth awr ei farn Ef." Yn ganlynol i gyhoeddiad cyffredinol y genadwri rybuddiol hon, gwelodd angel arall yn cyhoeddi llwyr ddinystr Babilon. Yn ystod y cyfnod o amser rhwng ehediad y ddau angel hyn, clywodd lais arall o'r nef yn gwaeddi, "*Deuwch allan o honi hi fy mhobl i*, na fyddwch gyfranogion o'i phechodau fel na dderbynioch o'i phläau." Craffer mai "llais o'r nef" oedd i alw y Saint o Babilon, nid llais na dyfais ddynol, ac nid trwy ddoethineb ddynol yn unig, eithr trwy "lais o'r nef"—dadguddiad uniongyrchol

oddiwrth Dduw—dadguddiad newydd *cyfamserol* i'r ymgasgliad a welodd Ioan, yn galw pobl Dduw allan o'r Babilon gyfamserol, a hyny ond ychydig cyn ei chwymp. Os twyllwr oedd Mr. Smith, pa fodd y deallodd ac y cyd-ymffurfiodd efe yn ychwanegol at yr holl fanylrwydd rhag-grybwylledig, fod rhaid i'r Saint ymgasglu allan o Babilon, ac y byddai hyny yn ganlynol uniongyrchol i adferiad yr efengyl dragywyddol gan yr angel? Paham na ddywedasai, "Mae fy athrawiaeth yn wirioneddol achubol i'w hufyddion drwy aros yn eu gwlad? Os twyllwr oedd, paham gosod croes mor drom i'w chodi ag yw gan ddynion i adael gwlad a beddrod eu tadau? Paham trywanu llinynau cryfion perthynasol, y rhai yn naturiol a glymant galonau mor dyn, ac a wna yn anhawddach ufyddhau i'w alwad? Dywedir yn fynych wrthym, "Yr wyf yn credu ac yn hoffi eich holl egwyddorion oddieithr y myned ymaith o'r wlad: paham na allaf addoli Duw yma yn ogystal ag yn un parth arall o'r byd?" Ymddengys hyn yn rhesymol i'r meddwl dynol; a phaham na ragwelsai Mr. Smith ei fod, drwy orchymyn hyn, yn llyffetheirio ei hudoledigion, ac yntau yn ddigon doeth i ragweled yr holl fanylrwydd perffaith yn mhob peth arall? Eithr pe dysgasai efe ei ganlynwyr i aros yn mhlith cenedloedd llygredig y byd heb ymgasglu, er y buasai ei holl athrawiaeth ond hyn yn berffaith, buasai yr *un* camsynied hwnw yn brawf anwrthwynebol mai gau oedd ei broffes, ac mai twyllwr a fuasai yntau. Mae dystawrwydd dieithriad holl ddiwygwyr yr oesau mynedol, a'r ffaith nad oes neb arall o'r miliynau a broffesant fod yn weision Duw yn ein hoes ni, yn proffesu eu bod wedi derbyn gorchymyn trwy ddadguddiad i gasglu pobl Dduw, yn brawf mor gadarn ag yw dwyfol brophwydoliaeth na dderbyniodd neb o honynt oruchwyliaeth o'r efengyl dragywyddol, nac awdurdod i sefydlu teyrnas Dduw. Pe cawsent y cyntaf, cawsent hefyd orchymyn i gasglu y Saint o Babilon; canys ar eirwiredd Ioan,—yr oedd y naill a'r llall yn gyssylltiedig anwahanol â'u gilydd. Cyn adferiad yr efengyl dragywyddol nid oedd gan Dduw bobl yn Babilon, o ganlyniad ni allasai eu galw hwynt allan o honi.

Mae yn anmosibl i ddyn amddifad o awdurdod ddwyfol, trwy offeiriadaeth anysbrydoledig, a thrwy bregethu efengyl ddiryw-

iedig fabwysiadu pobl i Dduw yn Babilon, o herwydd mai hwynt-hwy eu hunain yw Babilon, a chan mai,—

"Fel ceir y tad y ceir y plant,
O dyfiant ac o dafod."

Felly delw Fabilonaidd fyddai ar eu proselytiaid neu eu plant mabwysiadol hwythau er pob peth. Wedi adferiad yr efengyl, yr apostoliaeth, a'r gallu anhebgorol yn unig y mae yn ddichonadwy gwneuthur dynion yn "bobl i Dduw" yn mhlith cenedloedd Babilonaidd. *Wedi* ac nid *cyn* hyny y clywid y "Llais o'r nef" yn galw y cyfryw bobl allan o blith y cenedloedd. Er mor annirnadwy oedd hyn oll i holl ddoethineb ddynol y cyn oesau, ni fu guddiedig oddiwrth olygon treiddgar Mr. Smith, ac nid anghofiodd ein hysbysu yn gywir am ei holl fanylrwydd. Onid yw yn rhyfedd, mewn difrif, os nad yn anhygoel, y gallai twyllwr gynnwys yn ei gyfundrefn, fel y gwna hwn, holl athrawiaethau a phob nodwedd a berthyna i oruchwyliaeth fawr y dyddiau diweddaf. Gwir fod dynion a dreiddiasant am ugeiniau o flynyddau i lyfrgelloedd duwinyddion ac yfed o ddoethineb yr oesau, wedi sefydlu cyfundraethau a gynnwysant lawer o wirioneddau, ac a arddangosant gryn lawer o ddoethineb; eithr wele yma fachgenyn dwy ar bymtheg oed, heb ddim o'r manteision hyny, wedi ei fagu yn nghoedwigoedd yr anialwch gorllewinol, heb ganfod sêr, llawer llai hauliau ein ffurfafen foesol erioed, wedi dyfeisio yn ddigymmorth a sefydlu yn llwyddiannus, gyfundrefn yn groes anghymmodol i'r lleill i gyd, yn annibynol arnynt oll, yr hon sydd yn berffaith efelychiad o'r un ddwyfol yn mhob rhan, egwyddor, a manylrwydd o honi! Twyllwr digyffelyb oedd y bachgenyn hwn onide? Nid ymddengys ei fod yn talu y sylw lleiaf i pa mor groes y dysgai i athrawiaethau poblogaidd ein byd—ni ofynai opiniwn Athrofa na Choleg, ac nid ymgynghorai ag esboniad un esboniwr yn y byd. Nid ystyriodd un dim pa un a oedd ei ddysgeidiaeth yn gydymffurfiol â theimladau nac â phoblogrwydd yr oes. Nid ymholodd ai cydweddol ynte gwrthdarawiadol i deimladau y cyfoethogion fyddai gadael eu palasau, a'u hystadoedd ysplenydd, a'u mhoeth-fyd, na'r gost o ymfudo chwaith. Naddo, nid ymddengys un argoel o'i fod wedi meddwl dim am ymgynghori â chig a gwaed, na pha bethau a fyddent groes i, na

rhydweddol â theimladau dynol; eithr yn mhob amgylchiad, efe a lefarodd megys un a feddai awdurdod, gan ddywedyd,—"Fel hyn y dywed yr Arglwydd," am bob athrawiaeth, dyledswydd, ac addewid a gynnwysai ei gyfundrefn. Yn awr, fod bachgenyn dibrofiad, a diddysg yn proffesu rhoddi gair yr Arglwydd ar bethau mor bwysig—dadguddio athrawiaethau hollol groes i, nid yn unig ei ddraddodiadau ei hun, eithr yn groes i athrawiaethau a dysgeidiaeth y sectau lliosoccaf, mwyaf poblogaidd a grymus yr oes, ac ar yr un pryd fod yr athrawiaethau hyny yn hollol gydgordiol â, nid yn unig yr efengyl gyntefig, eithr hefyd yn gyflawniad perffaith o'r prophwydoliaethau manylaf perthynol i oruchwyliaeth y dyddiau diweddaf, sydd dystiolaeth a garia y gair "GWIRIONEDD" rhy amlwg ar ei gwyneb i'w cham ddeall, ac a ddylanwada yn effeithiol a pharhaus ar y meddwl myfyrgar, fel nad allwn braidd ymattal rhag dywedyd o'r galon, "*Yn ddiddadl mai Duw a ddanfonodd Joseph Smith.*

Eithr cynnwysa 'cenadwri Mr. Smith un nodwedd a ffurfia glorian gywir, yn yr hon y dichon y sawl a ddewiso, bwyso a phrofi yn ddiammheuol, pa un ai gau ynte gwir brophwyd oedd efe. Addawodd trwy ddadguddiad a broffesodd gael gan Dduw y byddai i apostolion yr eglwys hon, a'u hufyddion, fwynhau bendithion na allai neb ond Duw eu cyflwyno; gweler Ath. a Chyf., tud. 89,—"Gan hyny ewch i'r holl fyd, a pha le bynag nis gallwch fyned, rhaid i chwi anfon, fel y byddo i'r dystiolaeth fyned oddiwrthych chwi i'r holl fyd i bob creadur. Ac fel y dywedais wrth fy apostolion, felly yr wyf yn dywedyd wrthych chwi, canys chwi yw fy apostolion, sef archoffeiriaid Duw; chwi yw y rhai a roddodd y Tad i mi,—chwi yw fy nghyfeillion; gan hyny, fel y dywedais wrth fy apostolion yr wyf yn dywedyd wrthych chwi etto, y bydd i bob enaid a gredo yn eich geiriau, ac a fedyddir trwy ddwfr er maddeuant pechodau, dderbyn yr Ysbryd Glân,—a'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant:—Yn fy enw i gwnant lawer o weithredoedd rhyfeddol; yn fy enw i bwriant allan gythreuliaid; yn fy enw yr iachânt y cleifion; yn fy enw i yr agorant lygaid y deillion, ac yr agorant glustiau y byddariaid; a thafod y mudan a lefara; ac os rhydd neb wenwyn iddynt, ni wna iddynt ddim niwed; ac ni chaiff gwenwyn sarff allu i'w nhiweidio hwynt.

Ond gorchymyn yr wyf yn ei roddi iddynt hwy, nad oes iddynt ymffrostio yn y pethau hyn, na'u llefaru gerbron y byd, canys y pethau hyn a roddir i chwi er eich lles ac er eich iachawdwriaeth. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, y rhai na chredant ar eich geiriau chwi, ac na fedyddir mewn dwfr yn fy enw i, er maddeuant o'u pechodau, fel y derbyniont yr Ysbryd Glân, a ddemnir, ac ni chânt ddyfod i deyrnas fy Nhad, lle y mae fy Nhad a minnau." Gwelet yma ein Prophwyd olaf hwn yn rhuthro yn eofn drwy guddleni y caddug ar chwareulawr ein byd, ac yn rhoddi addewid bendant ar gyhoedd yr holl fyd i bob enaid, gwryw a benyw, cyfoethog a thlawd, o bob lliw, llwyth, a gwlad, a ufyddha i'w genadwri—addewid, meddwn, na feiddia yr un twyllwr ei rhoddi ar unrhyw ammodau gydag un gradd o obaith y cyflawnid hi. Addewid anmhosiadwy i alluoedd dynol ein daear ei chyflawni, o ganlyniad, y mwynhâd o'r hyn a addawa efe a fyddent yn ffeithiau dwyfol brofedig o'i ddanfoniad. Pe addawai twyllwr y bendithion a enwyd i'w ganlynwyr, dysgai ei synwyr ef na chaffent gyflawniad o honynt. Profa Mr. Smith ei hun yn anhebycach i dwyllwr drwy addaw y bendithion nag y profa eu gwadwyr eu hunain. Fe gredai ei hun yn ei ddwyfol ddanfoniad cyn y meiddiasai addaw pethau na allasai neb ond Duw eu cyfranu. Yn awr, pe na buasai yr arwyddion hyn yn canlyn yn ol ei addewid, buasai y cannoedd o filoedd a ufyddhasant i'w genadwri yn rhwym o fod yn gwybod drwy hyny mai twyllwr oedd Mr. Smith,—troiasai pob enaid oddiwrtho yn y fan, a chawsid diwedd ar y twyll. Eithr mae y ffaith o ufydd-dod lluoedd i'w genadwri yn flynyddol, a'u hymlyniad wrth yr eglwys yn dystiolaeth gadarnhaol o gyflawniad yr addewid—fod yr Ysbryd Glân yn cael ei fwynhau, ac y fod arwyddion gwyrthiol yn canlyn hefyd. Nid yw gwadiad y deillion sydd tu allan yn un prawf nad ydynt o'r tu fewn i'r eglwys lle y perthynant, ddim mwy nag a fyddai gwadiad deillion yr heol o fodoldeb y celfi mewnol yn brawf nad oeddynt yn y tŷ. A feiddia rhyw dwyllwr, blaenor plaid, Arch Esgob, neu un dyn o fewn y byd, a *ammheua* ei ddanfoniad ei hun, roddi yr addewid flaenorol i'w ufyddion? A glywir yr addewid hon yn cael ei chyhoeddi gan rywun o bwlpudau ein gwlad? O, na chlywir, ni feiddiant addaw dim o'r fath brawfiadau â hyn o ddwyfol ddanfoniad; gwyddant

yn ddiddadl y dadymchwelai ac y dynoethai hyny foelni a gwarth eu gau grefyddau dynol, anysbrydoledig a dinerth hwynt; hawddach celu eu cywilydd a'u cyfeiliornadau drwy haeru "Nad oes eu heisieu er yr oes apostolaidd," ac mai rhyfyg yw eu haddaw. O! ffolineb! eisieu crefydd ddwyfol ac etto ddim eisieu prawfiadau dwyfol o ba un yw hono! Dim anghen iachâu cleifion, aïe? I ba ddyben y mae miloedd meddygon ein gwlad? Dim anghen dadguddiadau presennol? I ba ddyben arall y mae anghen yr Ysbryd Glân, ynte? O, y gwahaniaeth dirfawr sydd rhwng crefydd Mr. Smith â Phabyddiaeth, Protestaniaeth, Mahometaniaeth, a phob *aeth* au-grefyddol arall—rhwng ei awdurdod ef ag awdurdod duwinyddion sectyddol ein byd! Addawa y naill i'w ganlynwyr fwynhâd o holl ddoniau yr Ysbryd Glân, a gwybodath o'i ddwyfol ddanfoniad, tra y gwada y lleill i gyd holl *rym* crefydd, hyd nes y maent megys sofl sychion yn aros y tân, ac yn dysgu ar y goreu ond i *ammheu* a byw mewn *ofnau* a *dychrynfeydd* diddarfod.

Wedi galw sylw at yr ychydig hyn, o lawer o'r tystiolaethau a feddir o ddwyfol ddanfoniad Joseph Smith, ychwanega yr awdwr ei dystiolaeth fod Duw wedi profi y ffaith hon iddo ef mewn llawer dull uwch-dynol, a thystia miloedd hyny drwy ein gwlad. Ufyddhaer i'w genadwri a mwynheir ei haddewidion, drwy yr hyn, gall *pob un wybod* mai chwedlau anwireddus yw yr oll a draethir yn erbyn cymmeriad Joseph Smith a'i gyfundrefn; a'i gwnelo a fydd cadwedig; a wrthodo, a euog fernir gan y tystiolaethau hyn o flaen y Duw a ddanfonodd Jeseph Smith.

Ar i'r tystiolaethau hyn, dan arddeliad Ysbryd y gwirionedd, argyhoeddi y darllenydd i ufyddhau i'r galwad dwyfol hwn, a mwynhau tystiolaeth yr Ysbryd Glân megys ninnau, gweddia

YR AWDWR.

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, ABERTAWY.

